YR

# EPISTOL

# CYFFREDINOL CYNTAF

ODDIWRTH

## BRIF LYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, O DDYFFRYN Y LLYN HALEN FAWR,

AT Y

SAINT GWASGAREDIG AR HYD Y DDAEAR,—

YN ANERCH:—

ANWYL FRODYR,—Oddiar pan ysgrifenwyd Epistol Cyffredinol y Deuddeg Apostol, o Winter Quarters, Rhagfyr 23, 1847, y mae llawer o ddygwyddiadau wedi cymmeryd lle, ag sydd yn ddyddorawl iawn yn eu perthynas â chynnyddiad yr eglwys, yn barotoadol i ddyfodiad Mab y Dyn; ac yr ydym, gyda sirioldeb, yn gwneyd defnydd o'r cyfleusdra cyntaf hwn i wneyd yn hysbys i chwi hanes byr o'r dygwyddiadau dan sylw, ynghyd â'r cyfryw gynghorion a arweinir ni gan yr Ysbryd i roddi.

Treuliwyd gauaf a gwanwyn 1848 yn ddiwyd iawn gan amrywiol o'r apostolion a'r henuriaid, wrth ymweled â brodyr ac eglwysi yn ngwahanol barthau o'r Taleithiau, i'w cynghori a gosod mewn trefn y pethau sydd yn perthyn i'r deyrnas, ac i ymdrechu cael cynnorthwy er symud yr eglwys o Winter Quarters i Ddinas y Llyn Halen Fawr; ond, er i rai o'r Saint fod mor haelionus ag y gallent, etto ni chafwyd digon i dalu y ddyled ag oedd y lywyddiaeth wedi myned iddi wrth chwilio allan am drigfan newydd a gweith-

rediadau cyffelyb ereill er lesâd yr eglwys, heblaw rhoddi rhyw gynnorthwy at y daith a fwriadent, yr hyn a effeithiwyd yn y diwedd trwy gael benthyg wageni, &c., gan y brodyr ar diroedd Pattowatamie, a chyfeillion yn ac oddiamgylch y gwersyll.

Darfu i'r gynnadledd gyffredinol, ar y 6fed o Ebrill, 1848, a gynnaliwyd yn y Tabernacl coed, yn Iowa, gydnabod yn unfrydol y brawd Brigham Young i fod yn llywydd, ac Heber C. Kimball a Willard Richards yn gynghorwyr; y tri yn cyfansoddi corwm o'r llywyddiaeth flaenaf yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.

Gadawodd y brodyr Young a Kimball y Winter Quarters yn mis Mai, a'r brawd Richards yn Gorphenaf, gyda chwmpeini mawr o ymfudwyr i'r lle hwn, lle y cyrhaeddasant yn misoedd Medi a Hydref, a chawsant y Saint yn mwynhau braidd iechyd cyffredinol. Daeth yr Henuriad Amasa Lyman hefyd gyda y gwersyll hwn, ac oddeutu yr un amser yr aeth yr Henuriad Orson Pratt o Winter Quarters i Loegr. Cymmerodd yr Henuriad Woodruff ei daith i Canada, a thrigodd yr Henuriaid Hyde, a George A. Smith, ac Ezra T. Benson gyda y Saint yn Pottowatamio. Gadawodd y brawd Richards y Winter Quarters yn hollol wag; llawer o'n hanifeiliaid wedi eu dystrywio gan yr Indiaid, a llawer o'n ceffylau wedi eu lladrata o'r ddau tu i'r afon. Taniwyd ar gyfran o wersyll y brawd Kimball wrth afon yr Elk Horn, gan haid o Ottoes ac Omahas, a chlwyfwyd tri o'r brodyr, o'r rhai mae dau wedi eu hanafu am byth.

Ar y 30ain o Dachwedd, derbyniasom lythyron o Kanesville, Iowa, gyda Capt. Allen Compton a thri brawd arall, yn rhoddi i ni y newydd dymunol fod llawer o'r Saint ag oeddynt yn analluog i fyned yn mhellach ar eu taith, wedi sefydlu mewn amrywiol barthau o wlad Pottowatamie, a'u bod wedi eu bendithio yn fawr wrth godi llafur, cnydiau da, llysiau, diadelloedd, &c., a'u bod yn gyffredinol yn barod i ymfudiad dyfodol, ac undeb a chariad brawdol yn ffynu yn eu plith.

Trwy yr un llythyron cawsom wybodaeth hefyd am y llwyddiant anarferol sydd ar y gwaith yn Lloegr, a'r tiroedd Prydeinig cyfagos, ac fod yr eglwys wedi cynnyddu mwy nâ 7,000 yn ystod y flwyddyn flaenorol; tra yr oedd gallu Duw, ynghyd â gallu y diafol yn gwrthwynebu, yn cael eu gwneuthur yn hysbys, fel yn y dyddiau gynt, er llawenydd mawr i'r Saint.

Derbyniwyd diheuriad Lyman Wight yr un pryd, yr hyn a ddangosa yn eglur i'r Saint nad oedd efe yn un o honom ni, ac o ganlyniad diaelododd yr Eglwys ef, a phob rhai a barhant i'w ddilyn.

Pan yn cyrhaedd y dyffryn hwn, cawsom fod y brodyr wedi adeiladu pedair o amddiffynfeydd, wedi eu gwneyd i fyny y rhan fwyaf o dai, yn cynnwys oddeutu saith a deugain o erwau o dir, ac yn rhifo oddeutu 5,000 o eneidiau, rhwng ein gwersyll ni. Yr oedd y brodyr wedi llwyddo i hau a phlanu amrywiaeth mawr o hadau, yn mhob tymmor, o Ionawr hyd Gorphenaf, ar fferm oddeutu deuddeg milltir o hyd, ac o un i chwech o led, yn cynnwys ynddi dir sylfaen y ddinas. Cafodd y rhan fwyaf o'n cnydau cynhar eu dystrywio, yn mis Mai, gan griciaid a rhew, yr hwn a barhäodd yn achlysurol hyd Mehefin; tra cafodd y cynauaf diweddar ei niweidio gan sychder a rhew, yr hwn a ddechreuodd ei ddystryw oddeutu y 10fed o Hydref, a thrwy doriad anifeiliaid allan o'u diadelloedd Nid oedd y brodyr yn ddigon lliosog i ymladd y criciaid, dyfrhau y cnydau, a chloddio oddiamgylch eu planfeydd helaeth; o ganlyniad, dyoddefasant golledion trymion; er fod y treial a wnaed y flwyddyn ddiweddaf yn ddigon i brofi y gellir codi cnydau gwerthfawr yn y dyffryn hwn gyda threfn dda.

Yr oedd gauaf 1847-8 yn dra mwynaidd, digonedd o borfa, a'r anifeiliaid yn ffynu arno, a'r ddaear yn cymmeryd ei thrin y rhan fwyaf o'r amser bob mis; ond yr oedd gauaf 1848-9 yn dra gwahanol, ac yn fwy tebyg i auaf caled Lloegr Newydd. Yr oedd yn oer iawn o'r 1af o Ragfyr, hyd ddiwedd Chwefror. Yr oedd cawodydd eira yn fynych, ac er fod amryw ddadleithiadau yn cymmeryd lle, nid oedd y ddaear heb eira arni yn ystod y tymmor hwnw, yn amrywio o un i dair troedfedd mewn dyfnder. Y dydd oeraf o'r gauaf diweddaf oedd y 5med o Chwefror, pryd y cwympai yr arian byw 33 o raddau islaw y pwynt rhewllyd; a'r dydd mwyaf gwresog oedd dydd Sul, y 25ain o Chwefror, pryd y codai yr arian byw i 21 o raddau uwchlaw y pwynt hwnw, yn ol Fahrenheit. Y mae gwyntoedd cryf a gwrthwynebol wedi bod yn fynych. Mae yr eira ar y mynyddoedd amgylchynol wedi bod lawer yn ddyfnach, yr hyn sydd wedi achosi anhawsdra i gael coed; tra mae'r anifeiliaid wedi myned i edrych mor wael, trwy y diffyg o ymhorth, fel nas gallent lusgo yr hyn oedd eisieu o danwydd, ac y mae llawer wedi gorfod dyoddef mwy neu lai o'r herwydd. Dechreuodd y gauaf mewn amser annysgwyliadwy ac anaterol,

gan ddal llawer o'r brodyr heb dai na thanwydd; ac er fod cryn ddyoddef wedi bod, etto ni achoswyd un farwolaeth gan y rhew. Y mae tri chynnyg wedi cael eu gwneyd gan y brodyr gydag anifeiliaid neu esgidiau eira, i ymweled â Fort Bridger, er pan ddisgynodd yr eira, ond wedi methu; etto, dysgwylir y bydd Compton yn abl i gymmeryd y llythyr-god yn ddwyreiniol yn fuan ar ol Cynnadledd Ebrill.

Yn nechreu Chwefror, gwnaeth yr Esgobion gyfrif o'r defnydd bara sydd yn y dyffryn, pan y cyhoeddwyd fod ychydig yn fwy na'r drydedd ran o bedair o bwys y dydd i bob enaid, hyd y 5med o Orphenaf, ac yr oeddid yn gwybod am ragor nag oedd wedi ei gyfrif. Fel canlyniad naturiol, yr oedd rhai yn meddianou digonedd, tra yr oedd ereill braidd heb ddim. Pris cyffredin y llafur er y cynauaf oedd dau ddolar; rhai wedi gwerthu am dri; yn bresennol nid oes dim yn y farchnad am un pris. Mae gwenith wedi cyrhaedd o bedwar i bum dolar, a chloron o chwech i ugain dolar y bwshel; ac er nad oes dim ar werth yn bresennol, dysgwylir y bydd digon at hâd mewn blwyddyn etto.

Mae ein gweithiau cyhoeddus yn myned yn mlaen yn llwyddiannus, yn cynnwys cynghor-dŷ, 45 troedfedd ysgwar, dwy llofft, wedi ei adeiladu trwy ddegymu; hefyd, bont dros yr Iorddonen Orllewinol, gwerth 700 o ddolars, a chwech neu saith o bontydd dros afonydd bychain, i'w clirio trwy dreth ar feddiant; hefyd, badd-dŷ wrth y ffynnon dwymn.

Y mae cae oddeutu 8000 o erwau wedi ei fesur ar y tu dwyreiniol, ac yn gyfagos i'r ddinas, ac wedi ei ranu yn raniadau o bum i ddeg erw yr un, a ffarm eglwysig o 800 o erwau. Cafodd y rhanau pum a deg erw eu rhoddi rhwng y brodyr, trwy fwrw coelbren; ac y mae pob dyn i gynnorthwyo i godi clawdd cledr, pridd, neu geryg, fel y byddo fwyaf cyfleus, oddiamgylch yr holl gae, yn ol y gyfran a fyddo ef yn gael; hefyd, gamlas ar yr ochr ddwyreiniol, i'r dyben o ddwfrhau. Mae tair o felinau malu, a phump neu chwech o felinau llifo, mewn gweithrediad, a llawer yn ychwaneg mewn bwriad. Y mae'r meini malu i'w cael yma, yn gystal â'r *bur* Ffrengig.

Chwilir am le i sefydlu tanner-dy a thaweddl-dŷ mor fuan ag y galawa yr eira y mynyddau.

Mae yr amddiffynfeydd yn cael eu tori i fyny yn gyflym, gan fod y tai yn cael eu symud yn mlaen tua lotiau y ddinas; ac y mae y

ddinas eisoes yn ymddangos megys pe byddai yno er ys blynyddau; y fath ydyw diwydrwydd ac ymegnïad y Saint.

Mewn helfa auafol, gan ddau barti o gant o wyr bob un, dinystriwyd ynghylch 700 o fleiddiaid a'chadnoaid, 2 o wolverines, 20 o minx a chathau coed, 500 o hebogiaid, dylluanod, a phiod, a 1000 o gigfrain, yn y dyffryn a'r gymmydogaeth yma.

Ar ddychweliad nifer o'r Mormon Battalion drwy y rhan ogleddol o Galifornia Orllewinol, darganfyddasant fwngïawdd aur lled fawr, lle y galluogwyd hwynt trwy aros ychydig o ddyddiau i ddwyn ganddynt ddigon o'r llwch i wneyd arian yn lliosog yn y lle yma at ddybenion cyffredin y cyhoedd; yn y gyfnewidfa darfu i'r brodyr roddi y llwch aur i'r llywyddiaeth, y rhai a roddasant allan filiau neu bapyrau yn eu lle; ac y mae'r "Kirtland Safety Fund" wedi ei ail arwyddo, yn gyfartal i aur.

Cyrhaeddodd yr Henuriad Addison Pratt yma yn nghwmpeini rhan o'r fyddin ar yr 28ain o Fedi, 1848, a chafodd ei deulu mewn iechyd, wedi bod yn absennol oddiwrthynt oddeutu pum mlynedd, ar genadiaeth yn y Society Islands, lle y bedyddiodd ynghylch 1200 o eneidiau; ac y mae yr Henuriad Grouard, yr hwn sydd yn aros yno etto, wedi bedyddio 620 o honynt yn Ana. Y mae ymddiried y Saint brodorol yn ngwaith yr Arglwydd yn fawr iawn, ac y maent yn ymofyn am gynghorion yn barhaus, yn gymmaint felly ag i waith yr Henuriad Grouard fyned yn rhy annyoddefol iddo, a'i orfodi i forio 300 o filltiroedd mewn bad agored, i ddwyn y brawd Pratt i'w gynnorthwyo; ac er iddi fyned yn longddrylliad arno, etto fe lwyddodd, cymmerwyd ef i fyny gan long oedd yn pasio, cyflawnodd ei genadiaeth, a dychwelodd i Ana â'r brawd Pratt; fel hyn trwy lafur yr Henuriad Rogers, yr hwn a ddychwelodd ac a fu farw oddeutu dwy flynedd yn ol, a'r Henuriaid Pratt a Grouard, y mae'r efengyl wedi ei phlanu ar ddeuddeg neu bymtheg o'r Ynysoedd Gorllewinol.

Ar y laf o Ionawr, ordeiniwyd John Smith, ewythr i'r prophwyd, Joseph Smith, yn batriarch i'r eglwys, ac i ddal yr agoriadau a'r galluoedd perthynol, megis y Tad Joseph Smith ac Hyrum.

Ar y 12fed o Chwefror, ordeiniwyd Charles C. Rich, Lorenzo Snow, Erastus Snow, a Franklin D. Richards, yn aelodau o gorwm y Deuddeg Apostol, i lanw y bwlch a achosodd symudiad tri i'r brif Lywyddiaeth, a diarddeliad Lyman Wight. Y mae

enwau y Deuddeg Apostol yn awr, yn ol eu graddau, fel y canlyn: —Orson Hyde, Parley P. Pratt, Orson Pratt, Wilford Woodruff, John Taylor, George A. Smith, Amasa Lyman, Ezra T. Benson, Charles C. Rich, Lorenzo Snow, Erastus Snow, a Franklin D. Richards.

O Lywyddiaeth y Deg-a-thrugain, y mae Zera Pulsifer, Levi W. Hancock, Jedidah M. Grant, a Henry Herriman yn y dyffryn hwn. Y mae Joseph Young a Benjamin L. Clapp yn ngwlad Pottowattamie, ac Albert C. Rockwood ar genadiaeth i'r Taleithiau Dwyreiniol. Joseph Young yw'r swyddog llywyddol ar y Deg-a thrugain.

Yn union wedi llanw corwm y Deuddeg Apostol, aeth y brif lywyddiaeth, gyda chynnorthwy cymmaint o'r deuddeg ag oedd yn bresennol yn y dyffryn, i sefydlu *stake* o Seion yn Ninas y Llyn Halen Fawr; Daniel Spencer yn llywydd, a David Fulmer a Willard Snow yn gynghorwyr.

Yr Uchel Gynghor a gynnwys Isaac Morley, Phineas Richards, Shadrach Roundy, Henry G. Sherwood, Titus Sittings, Eleazer Miller, John Vance, Levi Jackman, Ira Eldridge, Elisha H. Groves, William W. Major, ac Edwin D. Woolley.

Mae John Young yn llywydd ar gorwm yr archoffeiriaid, a Reynolds a George B Wallace yn gynghorwyr.

Mae John Nebeker yn llywydd ar gorwm yr henuriaid, a James H. Smith ac Aaron Savey yn gynghorwyr.

Mae y dyffryn wedi ei settlo am ugain milltir yn ddeheuol, a deugain milltir yn ogleddol i'r ddinas. Mae y ddinas wedi ei rhanu yn bedwar-ar-bymtheg o ddosparthiadau; y wlad yn ddeheuol i dri dosparth, a'r wlad yn ogleddol i dri dosparth, ac ordeiniwyd esgob dros bob un, ynghyd â chynghorwyr iddo, a'r cyfan dan lywyddiaeth Newell K. Whitney, llywydd corwm yr esgobion, yr hwn a gyfarwyddwyd i osod yr holl swyddogion dano mewn trefn.

Y mae oddeutu deg-ar-hugain o'r brodyr wedi myned yn ddiweddar i Ddyffryn Utah, oddeutu triugain milltir i'r de, i sefydlu trefedigaeth fechan at ddybenion amaethyddol, a physgota, gan obeithio trwy hyny leihau yr alwad am gig eidion, yr hwn yn yr amser presennol sydd yn hytrach yn brin, ac yn amrywio o saith i wyth *cent* y pwys, ond daw yn well gyda'r tyfiant.

Mae dosparthiadau y ddinas, yn gyffredin, yn cynnwys naw block, pob un yn dri ysgwar, a bydd pob dosparth yn cael ei gau

i mewn, ar ddull cae mawr, i'r dyben o achub amser at amaethwriaeth.

O herwydd ymosodiadau Indiaidd ar ein ceffylau, da, a meddiannau ereill, ac ymddygiad drwg rhyw ychydig o wehilion ag sydd wedi dyfod i blith y Saint, y mae trigolion y dyffryn hwn, fel y mae yn arferol mewn gwledydd newyddion yn gyffredin, wedi rheoleiddio llywodraeth amserol, i fodoli tra byddo ei hangben, neu hyd oni allom gael ysgrif-fraint am lywodraeth diriogaethol, dros yr hyn y mae deiseb ar droed yn barod.

Y mae amryw o ysgolion wedi eu cynnal yn ystod y gauaf diweddaf, yn y rhai y mae yr Hebraeg, Groeg, Lladin, Ffrengaeg, Ellmynaeg, Tahitiaeg, a Seisnaeg, wedi bod yn cael eu dysgu yn llwyddiannus.

Yn yr hydref diweddaf, cafodd y brodyr ganiatâd i dori yr holl goed oedd o fewn deg milltir ar hugain i'r ddinas, ar yr ammod o fod iddynt eu cludo i'r ddinas yn ystod y gauaf. Buont yn lled lafurus, a gwnaethant yr hyn a allent, ond ni wnaethant ond dechreuad bychan tuag at sicrhau cymmaint ag oedd o fewn pymtheg milltir.

Yr oedd misoedd Mawrth ac Ebrill, hyd y 4ydd, yn dra mwynaidd a dymunol, a gwnaeth llawer o griciaid bychain eu hymddangosiad; ond y mae heidiau mawrion o gornicyllod wedi dyfod i'w plith, ac yn gwneuthur cryn rwygiadau yn eu rhesi.

O hyn allan ni fydd yn ddoethineb yn y Saint i ymfudo o'r Taleithiau neu Galifornia i'r lle hwn, os na fydd ganddynt wageni a digon o fodd i ymfudo heb gynnorthwy o'r dyffryn; a dylent gludo ganddynt ddigon o ddefnydd bara i barhau iddynt ychydig o fisoedd wedi dyfod drosodd; o herwydd ni fydd y cynauaf wedi ei gasglu, na'r llafur yn barod at hyny. Bydd trigolion y dyffryn yn gyfangwbl yn ymddibynol ar gynnyrch y tymmor hwn at eu cynnaliaeth, ac ni fydd amser ganddynt i adael eu llafurwaith, a myned â'u wageni i gludo gwersylloedd ymfudol, fel ag y maent wedi gwneyd hyd yn hyn. Heblaw hyn, y mae cryn nifer o ddynion, proffeswyr a dibroffes, Duw y rhai sydd yn dysgleirio fwyaf mewn aur, wedi myned, ac ar fyned, tua'r mwngloddiau aur, i drenlio'r tymmor: canlyniad naturiol yr hyn fydd lleihad yma yn y gwaith o godi llafur, tra na fydd lleihad cyferbyniol yn y bwytawyr, trwy fod llawer yn gadael eu teuluoedd ar ol. Y mae digonedd o areiddiau at feithriniaeth yn y dyffryn hwn, fel

nad oes achos ofni newyn; etto bydd yr holl amser a dreulir i gloddio am wreiddiau yn lleihau y gwaith amaethyddol, ac yn golled i'r cynauaf nesaf.

Mae y prinder llafur sydd wedi bod yn y dyffryn hwn oddiar y dechreu, wedi achosi lladdiad lleoedd o anifeiliaid, yr hyn a adawa le i ddiwalliad newydd mor fuan ag y byddo cyfleusdra yn caniatâu; a byddai yn dda i'n brodyr ymfudol gofio eu bod yn agored i golli llawer ar y ffordd; hefyd, y mae anifeiliaid yn feddiannau da ar ol cyrhaedd yma, ac nid oes achos ofni dwyn gormod o wartheg, treisiedi, defaid, ychain, neu y rhywiau mwyaf dewisol o anifeiliaid o bob math, i'r lle yma; o herwydd y mae pethau felly yn well yma nag aur, oblegid gellir pryna pethau â hwynt nas gellir ag aur; fel hefyd y gwna gwyddau, hwyaid, twrcïod, gieir o bob math, llestri tai, defnyddiau sych, groceries, gwydr ffenestri, hoelion (gan mwyaf 6, 8, 10, shingle, ac ychydig o bedair ceiniog), edau gotwm, amrywiaeth o stwff at liwio, yn neillduol dye setts, paentiau, gwm, myr, copal a shellac, spirits of turpentine, papyr, llyfrau, llifiau, durlifiau, ysgriwiau, a llafnau tin o'r math goreu, durgelfi, cyllyll, &c., haiarn at felinau a gwaith fferm, llafnau haiarn, dûr o bob math, llafnau copr a phres, llestri pridd, gwydrau, drych-wydrau, lledr esgidiau, harneisiau, addurniadau harneisiau, llifiau melinau, offer gweithwyr, gwirs o bob maintioli, cloion ac addurniadau drysau, cwpbwrddau, a chloion egwyd;—yr holl bethau hyn ydynt yn well nag arian yn y ddinas hon. Byddai yn well fod y llestri pridd a phob math o wydr yn cael eu pacio mewn cotwm, er eu cludo yn ddiogel, a bydd y cotwm yn wasanaethgar iawn yma. Bydd eisieu amrywiaeth o ledr esgidiau y tymmor hwn, a chyflawnder o hono.

Y mae amrywiaeth mawr o yd a hadau yn y dyffryn eisoes, ond ni ddylai hyny rwystro y Saint rhag dyfod â hadau dewisol ganddynt o bob rhan o'r ddaear, o herwydd y mae pob peth da a ellir godi yma yn eisieu; ac y mae eisiau cyflawnder o hadau Osage orange, Cherokee rose tree, a'r ddraenen wen Seisnig, y flwyddyn hon, at berthi, a'r gloronen, neu'r winwynyn mynyddig, at fwyta; hefyd hadau lobelia, morwydd, a locust du. Bydd unrhyw gyflawnder o silesia pur, neu hadau beatws Ffrengig, yn ddefnyddiol yma yn y tymmor hwn

Bydded i'r brodyr yn Pottowatamie, y rhai ni allant drefnu eu hunain i ddyfod tuag yma y tymmor hwn, fel y meddyliasom, aros lle y maent, gan ymegnio at hyny y flwyddyn nesaf; a bydd i'r

Saint yn yr Unol Daleithiau, Canada, Ewrop, Asia, Affrica, barhau i ymgasglu ar diroedd Pottowatamie, a pharotoi gyferbyn a'u taith ddyfodol yn gydunol â'n hysbysiaeth flaenorol o hyny. Er hyny, os oes dynion ieuainc neu sengl, neu ddynion â theuluoedd (y rhai a allant adael wedi darparu yn gysurus drostynt er dyfod y tymmor nesaf), y rhai a ellir hebgor yn Pottowatamie, i ddyfod yn mlaen yma y tymmor hwn, er codi llafur, adeiladu tai, &c., byddai yn dda iddynt i ddyfod; o herwydd gall un dyn felly wneyd fwy yma, gogyfer ag anghenrheidiau Saint dyfodol, nag a allai tri wneyd wrth aros yn Iowa; ond os oes ganddynt ddnw aur yn eu calonau, gwell iddynt aros lle maent. Bydded i'r holl bethau hyn gael eu penderfynu mewn doethineb yn y cynghor sydd yn eich plith.

Edrycha y cyfryw o'r Deuddeg sydd yn Pottowatamie fod copiau o'r epistol hwn yn cael eu gyru at y Saint yn mhlith yr holl genedloedd Dwyreiniol.

Mae yr Henuriad Amasa Lyman wedi ei benodi i gario yr epistol hwn i'r Saint yn Nghalifornia Orllewinol, a pheri iddo gael ei wasgaru yn mhlith y brodyr yn y byd gorllewinol, mor bell ag y mae yn bosibl; heb anghofio y Society Islands, lle mae yr Henuriad Addison Pratt, a'i deulu, ac henuriaid ereill, yn bwriadu myned y tymmor presennol.

Dymunwn adgoffa y Saint yn Nghalifornia Orllewinol, y rhai nid ydynt yn dyfod yma y tymmor hwn, fod yn eu gallu i wneyd daioni mawr, trwy ddanfon eu degwm a'u rhoddion i'r lle hwn, hyd eithaf eu gallu; a pha fwyaf haelionus y byddont yn y peth hwn, y tymmor yma, mwyaf i gyd fydd ganddynt hwy i ddyfod pan y deuant; o herwydd y mae eisieu eu hoffrymau yn awr ar y Saint tlodion, ac y mae yr Arglwydd wedi rhoi gallu i chwi i'w cynnorthwyo, a gofynir eich goruchwyliaeth oddiar eich dwylaw; ac yn ol fel y byddoch chwi yn rhoddi, y rhoddir i chwithau.

Y mae amrywiol o henuriaid wedi eu hapwyntio yn barod ar genadiaethau tramor, i'r Ynysoedd Gorllewinol, Lloegr, a gwledydd ereill; ond cyfarwydda doethineb fod i'w llafur gael ei gadw yma, o leiaf hyd oni fyddo y cynauaf dyfodol wedi pasio.

Y mae'r brodyr Parley P. Pratt a John Taylor, yn gystal ag Amasa Lyman a'r cyfryw o'r Deuddeg a ordeiniwyd yn ddiweddar, yn y lle hwn, yn llafurio ddydd a nos er gwneyd daioni i'r eglwys a sefydlu eu teuluoedd yn gysurus, fel y gallont gael y

fraint etto o fyned allan at y cenedloedd a phregethu yr efengyl. Os yw y Saint sydd ar wasgar am weled yr henuriaid o'r lle hwn, bydded iddynt ddanfon atom yn ol eu gallu o'u heiddo, fel ag y byddo i ddwylaw y ffyddlawn gael eu rhyddhau; fel y byddo i'r cortynau gyda pha rai y maent wedi eu rhwymo gael eu tori, ac fel y byddo henuriaid Israel yn teimlo eu hunain mor rhydd â'r awyr, ac i fedru gadael â chalonau llon eu teuluoedd a'u perthynasau, a'r oll sydd yn anwyl ganddynt yma, ac hedeg ymaith megys ar adenydd eryrod at y cenedloedd, cyhoeddi efengyl yr iachawdwriaeth, dydd gwaredigaeth i'r gorthrymedig; casglu erwydriaid Judah a gweddillion Ephraim o'r pedwar gwynt, i wlad eu hetifeddiaeth; fel y byddo i Seion gael ei hadeiladu, Jerusalem ei hail-sefydlu, a gogoniant y dydd diweddaf i lanw y ddaear.

Yr ydym wedi dweyd wrth y Saint lawer gwaith, y dylai pawb sydd yn dyfod i'r lle hwn fod wedi hollol benderfynu cadw gorchymynion Duw a gweithredu cyfiawnder, onide nad allant ddysgwyl i fendith y Nefoedd orphwys arnynt; o herwydd nid oes dim yma yn rhwystr i un dyn weithredu yn uniawn; a chan wybod fel ag yr ydym am demtasiynau a bwriadau gelyn pob daioni wrth geisio arwain pobl ar gyfeiliorn oddiwrth lwybr dyledswydd, gorfodir ni i ddweyd wrth y Saint, fod yn well i'r rhai hyny sydd heb osod eu calonau yn ddigonol ar weithredu cyfiawnder a dilyn cynghor y sawl a apwyntiodd Duw i arwain ei bobl yn y dyddiau diweddaf, ond sydd yn caru ychydig o lwch dysglaer, neu budr elw, ac yn gofalu mwy i foddloni eu tueddiadau cybyddlyd eu hunain, trwy redeg yma ac acw ar ol iddynt gyrhaedd y lle hwn, fel y gwynt ar y mynyddoedd, i gadw eu hunain ymaith; nid oes yma eisiau Saint o'r fath: nid oes gan Dduw un defnydd iddynt, ac nid oes gan ei weision; o herwydd gellir adeiladu teyrnas nefoedd yn well hebddynt na chyda hwynt.

Na feddylied y Saint, o herwydd nas gallant oll ymgasglu i'r *Lake* hon o Seion yn yr amser presennol, nad oes dim iddynt i wneyd. Pregethed yr henuriaid yr efengyl yn mhob lle, fel y cânt gyfleusdra, a bydded i'r Saint yn mhob man wylio a gweddio yn ddibaid, rhag eu cael hwy yn cysgu, megys ar ganol nos, ac i'r Priodfab wneyd ei ymddangosiad, a chau y drws yn eu herbyn; canys ni fu amser, oddiar pan ddaeth allan Lyfr Mormon, pryd y bu mwy helaeth at ymarferyd ffydd a gweithredoedd da, gydag argoelion am lwyddiant, nag sydd yn bresennol.

Yr adeiladau cyhoeddus a gweithiau cyhoeddus ereill sydd yn

ofynol er sefydlu *stake* o Seion yn y lle hwn, a ofynant lawer iawn o eiddo, heblaw gwaith a llawer o ddefnyddiau, fel gwydr ffenestri, hoelion, pethau at ddrysau, &c., y rhai a fydd eu heisieu cyn y gellir eu gweithio yma; bydd eisieu modd i brynu a chludo yr holl bethau hyn. Yr ydym gan hyny wedi apwyntio yr Henuriad Orson Hyde yn oruchwyliwr i ni yn yr Unol Daleithiau yn gyffredinol, i dderbyn a chasglu degwm a rhoddion. Yr ydym hefyd wedi apwyntio yr Henuriad Wilford Woodruff yn oruchwyliwr i dderbyn a chasglu degwm a rhoddion yn Canada, Nova Scotia, Brunswick Newydd, ac ynysoedd cyfagos, fel y byddo yn cael cyfleusdra. Yr ydym hefyd wedi apwyntio yr Henuriad Orson Pratt, o Lerpwl, yn oruchwyliwr i dderbyn a chasglu degwm a rhoddion yn Lloegr a'r Ynysoedd Prydeinig, ac oddiwrth yr holl Saint cyfagos; ac yr ydym yn gwahodd yr holl Saint yn y dwyrain i fod yn ffyddlawn a diwyd i wneyd eu cyfraniadau i'n goruchwylwyr hyn, fel y byddom ni yn fuan yn cael modd i fynu y defnyddiau ag sydd yn angheurheidiol er cyflawni y gwaith a roddodd Duw i ni i'w wneyd; a bydd i'n goruchwylwyr gadw cyfrif cywir a manwl o'r holl ddegwm a'r rhoddion, a gwneyd â hwy yn ol fel y byddom ni yn gorchymyn.

Ar y 4ydd o Ebrill, bu cafod drom o eira yn y dyffryn, ond yr oedd y ddaear yn glir eilwaith hanner dydd dranoeth. Achosodd rhywfaint o wlaw ar y 6fed ohiriad cynnadledd flynyddol yr eglwys hyd y 7fed, a threuliwyd y dydd mewn pregethu a dysgu, a therfynwyd y gynnadledd ar brydnawn y Sabboth, wedi cael presennoldeb cynulleidfa fawr o'r Saint, y rhai yn unfrydol a gymmeradwyasant y gwahanol swyddogion a enwir yn yr epistol hwn.

Penodwyd fod i'r Henuriad Parley P. Pratt fyned yn genadwr i'r Ynysoedd Gorllewinol, lle dysgwylir iddo fyned cyn un gauaf arall. Dysgwylir hefyd yn yr un amser y bydd i'r Henuriad Charles C. Rich fyned ar ei genadiaeth yntau, trwy sefydlu ei hun a'i deulu rywle yn Nghalifornia Orllewinol.

Bydded y Saint yn ffyddlawn yn mhob gair a gweithred dda, ac yn ddiwyd yn mhob peth, ac etto nid trwy frys a gwastraff, yr hyn sydd yn achosi dystryw; ac, yn gymmaint ag nas gallant fod yn barod i ddyfod yma y tymmor hwn, bydded iddynt fod yn ddiwyd yn ymbarotoi, ac i ddysgwyl eu hamser mewn amynedd, a bydd yn dda arnynt; o herwydd yr Ysbryd Glân a drig gyda

hwynt, yr hwn a achosa lawenydd calon a sirioldeb gwynebpryd, fel ag y bydd pob baich yn ysgafn, a phob iau yn esmwyth,—ys hyn yw gweddi eich brodyr yn y cyfammod newydd a thragwyddol, a'ch gweisión yn wastadol er mwyn Crist. Amen.

Brigham Young,
Heber C. Kimball,
Willard Richards.

(*Cyfieithwyd o'r New York Herald, am Fehefin* 22, 1849, *gan* J. Davis.)

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.